# DIRGELION SAINT

Y

# DYDDIAU DIWEDDAF,

YN CAEL EU

# DINOETHI.

---

GAN HUGH JONES.

YR HWN A FU YN ATHRAW YN EU PLITH AM DDWY FLYNEDD.

---

CAERNARFON:

ARGRAFFWYD GAN THOMAS JONES EVANS.

1852.

# RHAGYMADRODD.

---

ANWYL GYDWLADWYR,

Yr wyf oddiar ystyriaeth ddifrifol o'r cyngor Apostolaidd "Tithau pan y'th droer, cadarha dy frodyr," yn dymuno cyflwyno y llyfryn hwu i'ch sylw.

Yr wyf wedi bod yn Proffesu Mormoniaeth, aethum atynt o ddyben cywir; yr oedd arnaf awydd am "rodio a boddloni Duw," ac nid oedd un aberth yn ormod genyf wneyd er enill cymeradwyaeth yr Anfeidrol, ond wedi byw yn ol y sect fanylaf yn Formon, (neu yn ol eu rhagenwad eu hunain yn Sant y Dyddiau Diweddaf). Cefais gyfleusdra i ddyfod yn adnabyddus o'u gwahanol drefniadau, o'u twyll a'u hannuwioldeb, fel yr oedd fy nghydwybod yn fy ngorfodi i ddadwneyd hyd y gallwn, hyny o niweid a ddichon i mi fod wedi ei wneyd trwy amddiffyn y fath gyfundrefn; ac nid oes genyf fodd i wneyd hyny ond trwy y Wasg.

Yr oedd fy holl enaid gyda'r Mormoniaid am flynyddau, ac nid allasai dim ond ystyriaeth o'm dyledswydd fy ngorfodi i ddyfod allan yn eu herbyn.

Yr wyf wedi cael ar ddeall fy mod yn bresenol yn cael fy nghablu ganddynt: ond cefais bapyr o ollyngdod oddiwrth yr Eglwys (fel eu galwont) yn Liverpool, at yr Eglwys yn Nghaernarfon, lle yr ewyllysiais ddyfod i ymryddhau, gan mai yno yr ymunais.

Nid oes genyf ond gobeithio y bydd darlleniad y tudalenau canlynol yn foddion i atal y rhai a ddichon fod yn blantos, rhag cymeryd eu harwain at y fath ynfydrwydd, ac yr wyf yn hyderu y bydd yn foddion i agor llygaid pob un didwyll a ddichon fod yn eu plith, fel y gallo ffoi o'r fath Sodoma.

Ydwyf yr eiddoch,

HUGH JONES.

Caernarfon, Tach. 6ed, 1852.

# DIRGELION Y SAINT, &c.

---

HYFRYD gan y morwr fydd cyrhaedd rhyw borthladd ar ol bod mewn peryglon yn nghanol ystormydd ar wyneb yr eigion brochus a chynhyrfus, er ei fod wedi curio yn ei wedd, ac arwyddion caledi ar ei holl ystum; er hyny, gan ei fod yn y porthladd y mae gobaith iddo ail gasglu ei nerth, a gwisgo ymaith holl arwyddion y caledi yn llwyr, a chyn hir bydd mor galonog ag erioed i gychwyn mordaith drachefn. Dyna i raddau bychain ddarluniad o'm helynt inau ar ol bod yn mheryglon athrawiaethau ac egwyddorion SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,—hi a aeth yn llongddrylliad arnaf am y ffydd Saintyddol. Ond trwy fawr drugaredd yr wyf wedi dyfod i dir yn ddihangol, ac nis gallaf lai nag ymostwng ar fy ngliniau ar draethell eu dirgelion dichellgar i ddiolch i Dduw am fy ngwaredigaeth. Pe buasai y morwr wedi colli ei fywyd yn yr ystormydd y bu ynddynt, gallasai fod iachawdwriaeth ei enaid yn ddyogel er hyny, ond am danaf fi fy iachawdwriaeth oedd yn y perygl, oblegyd ystormydd *gau athrawiaethau* crefyddol oedd y rhai y bum ynddynt.

Ond gan fy mod wedi cyrhaedd y lan, hyderaf yn nhrugaredd y preswylwyr y dygant fi i ryw dŷ, ac yr ymgeleddant fi, er mor druenus ydwyf. Yr ydwyf yn wir wedi fy anurddo yn fawr, a phob peth a feddwn ond y bywyd yn unig wedi colli; ac os caf le ar aelwyd rhyw un hael ei galon, mi a fyddaf yn ddiolchgar, a chan gymeryd cysur, mi a eisteddaf wrth y tân i adrodd i'r teulu caredig holl amgylchiadau y fordaith grefyddol hon.

Er ys rhai blynyddoedd bellach, daeth y "Seintiau,"* fel eu gelwid, i bregethu i'r gymydogaeth lle yr oeddwn yn byw, a mawr oedd y rhedeg i'w gwrandaw, ac yn eu plith minau a euthym; ac oherwydd fy mod yn aelod crefyddol er's blynyddau, ac yn cymeryd arnaf fod yn lled ymchwilgar, yr oeddwn wedi tybio fod yn anghenrheidiol cael diwygiad mewn amryw bethau a ymddangosent i mi yn anghyson. A phan ddaeth y Seintiau, a nodi yr un pethau ag oedd mewn dadl yn fy meddwl, dywedais yn y fan, dyna nhw—dyna y bobl sydd yn pregethu yr Efengyl yn iawn. Ac felly y bum am ysbaid yn myfyrio ar y ddysg newydd hon, gan ei chyferbynu â'r ddysg oedd genyf o'r blaen; ac ar bob cynyg yn ei chael yn tra rhagori; a phob cyfle a gawn ymddyddanwn â'r pregethwyr dyeithrol hyn, hyd nes oeddwn yn ddiarwybod i'm fy hun, o'r braidd wedi llyncu y ddysgeidiaeth, ac yn foddlawn aberthu cymaint oll a feddwn ar ei hallorau. Y pregethwyr hyn a ddywedant wrthyf eu bod hwy wedi derbyn yr Ysbryd Glân yn ei ddoniau anghyffredinol—eu bod wedi eu hanfon ganddo i bregethu—wedi eu hawdurdodi i wneud gwyrthiau, a bod pwy bynag a dderbynio

eu cenadwri—a gredo eu hathrawiaethau, ac a gydymffurfiai a'u holl arferion, i dderbyn yr unrhyw, yr un modd a hwythau; ac nad oedd yr holl bleidiau eraill, yn gystal Ymneillduol a Sefydledig, ond honwyr twyllodrus a diawdurdod; ac er proff gwirionedd eu haeriadau dangosent i mi mor wrthwynebol i'w gilydd oedd yr holl bleidiau crefyddol, ac felly nad oedd yn ddichonadwy eu bod o'r gwirionedd, a bod yr Ysbryd ganddynt, "Canys nid yw Duw *awdwr* anghydfod, ond tangnefedd." A phe y buaswn yn deall mymryn o *logic* y pryd hwnw, buaswn ar unwaith yn canfod eu bod hwy yn waeth na'r *holl sectau* eraill yn un, oblegyd eu bod wedi codi yn ddiweddarach ac yn wrthwynebol iddynt oll!! Ac felly nid oeddynt hwythau o'r gwirioned, ac nid yw yr Ysbryd ganddynt chwaith. Hefyd dywedent wrthyf, os oedd y doniau gwyrthiol yn anghenrheidiol ar gychwyniad yr efengyl, eu bod yr un mor anghenrheidiol eto, ac y byddai i bawb a dderbynio eu tystiolaeth *hwy*, a chredu yn gadarn eu dwyfol anfoniad *hwy*, dderbyn y cyfryw, ar ol eu bedyddio ganddynt *hwy*, trwy arddodiad eu dwylaw *hwy?* Ond waeth tewi, atynt yr euthym. Ac wrth ganfod unoliaeth eu hathrawiaethau â'r ysgrythyrau, yn ol fy marn ar y pryd hwnw, mi a gredais mai hwynt hwy oedd gwir ac unig Eglwys Dduw yn y byd hwn, ïe, credais mor gadarn yn eu dwyfol anfoniad fel adferwyr Cristionogaeth, fel yr oeddwn yn gwbl foddlon i bob gwaradwydd er eu mwyn. Yn awr, bedyddiwyd fi, (er fy mod wedi fy medyddio o'r blaen. Yr Arglwydd a faddeuo i mi am y fath watwariaeth ar ei ordinhad santaidd), a dyna fi o fewn

# DIRGELION SAINT

Y

# DYDDIAU DIWEDDAF,

YN CAEL EU

# DINOETHI.

---


GAN HUGH JONES.

YR HWN A FU YN ATHRAW YN EU PLITH AM DDWY FLYNEDD.


---


CAERNARFON:

ARGRAFFWYD GAN THOMAS JONES EVANS.

1852.

chwaer yn edrych yn llawer mwy *hearty* wrth ddrachtio dwfr y ddwy-big nag y gwelais hi erioed pan yn drachtio ffolineb y Saint. Ti a gyd-ddygi â mi fy narllenydd, pan y dywedaf wrthyt fy mod inau yn ngwresawgrwydd fy sel benboeth wedi gwneud rhyw dwmpath eithin, yn agos i Gemaes, yn Sir Fon, yn allor, ar yr hon, neu i'r hon yn hytrach yr aberthais fy mlwch tobaco a chymaint ag oedd ynddo, a bum am tua naw mis o dan lywodraeth y llwyrymataliad.

Y mae dyfais arall ganddynt i gael arian, sef gwerthu darlun Llywydd Cymru, fel ei gelwir, yr hwn sydd lywydd cyffredinol dros holl eglwysi y Saint yn Nghymru. Nid ystyrir y bydd bendith na llwyddiant byth yn nhai neb o'r Saint yn Nghymru oni fydd darlun o'r Llywydd hwn yno, fel gwarcheidwad arnynt, i gadw yr holl ysbrydion drwg draw; oblegyd megis ag yr oedd cysgod Pedr yn rhoddi iachâd i gleifion, felly y mae darlun o'r Llywydd hwn yn cadw heintiau a phläau, a chythreuliaid draw. Ac heblaw hyn oll y mae llawer o gasgliadau damweiniol yn talu ymweliad â'r Saint yn achlysurol, a sonir hefyd am *godi degwm*, pe byddai yr eglwysi wedi dyfod yn fwy lluosog; oblegyd y mae hyny yn rheol yn y Dyffryn yn barod. Gallaf sicrhau fod yn rhaid cael o haner coron i goron bob wythnos cyn dyfod i fynu â'r holl gasgliadau hyn, ac oni wneir ymdrech i ddyfod i fynu a hwy, ni bydd y cyfryw yn Sant cyfrifol ac anrhydeddus. Ac heblaw hyn oll y mae cymaint o greaduriaid crwydredig o dan enwau pregethwyr yn dyfod heibio mor aml, ac oni fydd i chwi lwytho eu gwagleoedd â thrugareddau, ni fyddwch yn Sant o werth nodwydd yn eu cyfrif. Y

maent yn haeru fod ganddynt awdurdod oddiwrth Dduw i fynu cael eiddo yr aelodau. Dywedodd fy ngwraig wrthyf fod Mr. Phillips, dan ei enw, sef Llywydd Cymru, wedi dyfod i Gaernarfon pan nad oeddwn i gartref, a'i fod wedi dyweyd ei fod ef wedi dyfod i ymofyn am eu *calonau a'u cyfoeth* hefyd, a bod ganddo awdurdod oddiwrth Dduw i ymofyn am eu cyfoeth!! Tybiwyf pe buaswn gartref, y buaswn yn gofyn am weled ei *warrant*, neu gael rhyw brawf o'i bodolaeth. Druan o hono, pe cawsai gymaint ag oedd ar ein helw fel cangen-eglwys ni buasai yn llawer mwy diwall. Oni fuasai yn fwy cymhwys a chydweddol i ŵr fel efe ddyfod yn fwy tebyg i weinidog Crist trwy y parth hwn o'i lywodraeth, nag fel y daeth? Yr oedd yr olwg arno yn fwy tebyg i *deurant* gwladol nag i weinidog Cristnogol; yr oedd wedi ei wisgo â chadwynau heirdd, ac mewn cerbyd ardderchog, ac yn ddigon taögaidd i hawlio eiddo creaduriaid tlodion oedd o'r braidd yn methu a chael bara i'w plant bychain!!!

Ond wedi y cyfan oll ceir clywed y SAINT wrth bregethu yn ymffrostio yn chwyddedig eu bod hwy yn pregethu Crist yn rhad! Dyna i chwi, gydwladwyr, pa beth yw eu *rhadlonrwydd.* Dyna y dirgelwch yn awr i'r goleu, ie, dyna y dirgelwch i chwi yn rhad, ond y mae yn ddrud i mi, dyn a'm helpo.

Yn awr rhaid i ni ddadlenu ychydig ar ddirgelwch eu dysgyblaeth a'u hathrawiaethau. Nid ydynt yn addef fod y Bibl yn ddigonol a chyfaddasol i'n hamgylchiadau ni yn yr oes hon, y mae anghenrheidrwydd parhaus am ddatguddiadau o'r nefoedd, ac i gyfateb â

hyn y maent hwy yn proffesu eu bod yn cael y cyfryw; ac yn mhlith pethau eraill y maent yn cael llyfrau, y rhai ydynt yn gyfaddasol i'r oes bresenol; un o honynt ydyw yr hwn a alwent Llyfr Mormon. Y maent yn cymeryd arnynt fod y Llyfr hwn wedi cael ei ddadguddio ar y cyntaf i un Joseph Smith trwy weinidogaeth angylion : ond y mae rhanau helaeth o hono heb eu dadguddio eto, a byddant felly meddynt hyd oni welo Duw yn dda eu hegluro i'w weinidogion, sef y Saint! Nid yw llyfr yr "Athrawiaeth a'r Cyfammodau," fel ei galwent, yn meddianu nemawr llai o awdurdod, yr hwn lyfr a gynwys eu holl reolau dysgyblaethol. Ond dyma ddirgelwch nas gellir ei gael allan yn berffaith, mae'n ddiau, hyd oni ddadguddir pob dirgelion yn ngoleuni y farn fawr, sef, eu bod yn unol â'u rheolau dysgyblaethol, meddynt hwy, yn arfer dysgyblaeth ar *rai;* ac yn gadael eraill yn ddigerydd, er eu bod wedi cyflawni yr un gweithredoedd ysgeler. Ië, yr wyf yn dyweyd *ysgeler*, a gwn y cydsynia y darllenydd â'r geirweddiad, pan y dadlenaf iddo y dirgelwch yn hyn. Y maent yn gosod allan yn eu plith eu hunain fod angenrheidrwydd yn galw ar i bob Sant gwryw ymofyn am Santes fenyw i fod yn *wraig santaidd (holy wife)* iddo, erbyn iddynt fyned i'r Dyffryn a'r Deml santaidd yn America; a bod yn gyfreithlawn iddynt ymofyn am dani, a chyfamodi â hi cyn cychwyn yno, pa un bynag a fyddo ganddynt wraig gyfreithlawn yn flaenorol ai peidio : ac os bydd ganddynt wraig gyfreithlawn, bydd hono yn *forwyn* i'r wraig santaidd wedi yr elont i aneddle eu santeiddrwydd y tu hwnt i for y Werydd. Ac y maent yn

cenadu i bob ymarferiad gwelyaidd gael ei ddwyn yn mlaen gan y pâr santaidd cyn yr elont o'u gwlad, ond gofalu na byddo neb amgen na Saint yn gwybod dim am hyny. Yn gydunol â'r gosodiad hwn, darfu i Lywydd Cydnadledd wybyddus i mi weithredu yn santaidd fel esiamplydd anffaeledig i'r dosbarth y perthynai iddo, a hyny yn Nghaernarfon, dan ei henw; a phwy bynag a deimlo ar ei galon awydd am ychwaneg o sicrhad i hyn, nid rhaid iddo ond cyfeirio ataf fi, yn ddirgelaidd neu gyhoeddus, caiff ei foddloni, oblegyd *ffeithiau profedig* yw baich fy nhystiolaeth, ac nid rhyw enllibiaeth wrachiaidd a chynenllyd; canys fy amcan penaf wrth ysgrifenu y nodion hyn ydyw bod yn rhyw gymhorth i eraill sydd wedi ei denu ganddynt, i ymwrthod â hwy, fel ag y gwneuthym inau, trwy fawr drugaredd y nefoedd. Darfu i'r Llywydd Gynhadleddawl dan sylw, ar ol profi graslonrwydd y fenyw santaidd, fod mor ddoeth ac efengylaidd ag hysbysu am y mwynderau a brofasai wrth Lywydd Cynhadledd arall, gan ddymuno i'w frawd anffaeledig yr un rhagorfreintiau, yr hwn, oherwydd fod ganddo fawr ymddiriedaeth *(interest)* yn y Llywydd cyntaf, a weithredoedd yr un modd a'i frawd. A chaniatau i mi gael egluro y dirgelwch yn unol a'm harwyddair, dyma y person a'm hysbysodd o'r gwirionedd am y pethau yr wyf yn awr yn eu mynegu, enw priodol yr hwn, oherwydd dyngarwch, a gadwaf i'm fy hun yn awr, hyd oni byddo rhyw un yn amlygu anghrediniaeth yn ngwirionedd fy hysbysiad. Pa fodd bynag, ymddygiadau anniwair y Llywydd Cynhadleddawl cyntaf a nodais a ddaethant yn gyhoeddus; ac oherwydd hyny

daethant yn bechadurus, a phenderfynwyd diarddel y brawd, ac felly y bu. Ond gan nad ydyw yr un ymddygiadau yn y Llywydd arall wedi dyfod yn gyhoeddus, nid ydyw yn bechod, ac felly nid oes un ddysgyblaeth wedi ei gweinyddu arno. Y mae i'r darllenydd ddeall, nad ydyw fod y Saint yn gwybod pethau fel hyn *am eu gilydd* yn cael ei ystyried yn beth *cyhoeddus*, ond ar ol i blant Babilon, sef pawb ond hwy eu hunain, ddyfod i wybod am y peth, yna y mae yn *gyhoeddus*, ac felly rhaid troi dalenau llyfr eu cyffes, a gweinyddu dysgyblaeth. Mewn gwirionedd, pa fodd y mae gwybyddiaeth *y byd* am droseddau yn eu gwneud yn bechod, pan nad ydyw gwybyddiaeth y Saint eu hunain o'r un peth yn ei wneuthyr felly? Yr ateb sydd barod,—dyna y dirgelwch. Y maent yn perswadio y menywod druain, mai anrhydedd o'r mwyaf fydd dwyn plant i boblogi y Baradwys hyfrydol yn y *Salt Lake* wedi yr elont yno, ac y mae yno yn awr luaws o wragedd *santaidd* yn meddiant yr un perchenog dedwydd. Clywais lawer gwaith fod hinsoddion yn effeithio ar dymherau, ac yn amgylchiad yr amlwreiciaeth Saintyddol, rhaid fod y chwedl wedi myned yn ffaith *(fact)*; canys pan fyddo dim ond *dwy* fenyw yn y wlad hon o'r un meddwl am ddedwyddu yr un person serchus, byddant yn meddianu y fath dymherau ag sydd yn hynodi y fangre ddiadlam, fel nas gallent gymodi â'r meddwl o gydfyw a'u gilydd mwy nag ellyllon, ac os dygwydd iddynt gyfarfod â'u gilydd yn rhywle, bydd Gramadeg Dic yn cael ei drafod ganddynt gyda deheurwydd dihafal; ond erbyn yr elont i Galiffornia, y mae yr holl sarug-

rwydd ar unwaith wedi colli, fel y mae degau o honynt yn ei hysdyried yn fraint i fod yn gyd-ddarostyngol i'r un pen gwrywaidd, gan gydymorchestu mewn hau y Baradwys â hadau Santawl, &c.

Y mae pob deddf, a phob rheol ac ymarferiad, nad ydyw yn ysgrifenedig, yn dyfod yn draddodiadol o'r naill swyddog i'r llall, o Fynydd Sïon; ac y mae rheolau newyddion yn cyrhaedd y wlad hon yn wastadol, ac yn eu plith, daeth rheol yr amlwreiciaeth; ac y mae yn weddus i mi gydnabod fy mod yn derbyn pob rheol newydd, gan gwbl gredu eu bod yn dwyn nodau argraffiadol o ddwyfoldeb, heb yr ysgogiad lleiaf o amheuaeth, â'm bod hyd yn hyn yn *Sant cydwybodol.* Ond pan ddaeth ymddygiad annheilwng y Llywydd a nodais i'm gwybyddiaeth, ac i mi glywed fod hyny yn gwbl wirionedd, fe redodd rhyw wreichionen o amheuaeth i fy meddwl, ac yn fuan hi a gynhyddodd yn fwy, fwy, hyd nes yr aethym yn hollol annedwydd yn fy nheimladau. Ofnais—synais—ymholais. Beth, meddwn, a ydyw Duw wedi cyfnewid, yr hwn a ddywedodd "Na wna odineb?" neu Iesu Grist, yr hwn a ddywedodd fod "Pob un a'r sydd yn edrych ar wraig i'w chwenychu hi, wedi gweuthur eisioes odineb â hi yn ei galon." Pa fodd y mae Iesu Grist yn gyson âg ef ei hun pan y caniataodd bethau gwahanol i Saint y Dyddiau Diweddaf rhagor Saint y dyddiau cyntaf? Yr oeddwn yn teimlo yn lle heddwch chwerwder chwerw, yn methu cysgu, bwyta, nac ymgysuro mewn unrhyw beth; yr oeddwn yn gweled fy mod wedi gwerthu fy enw da, a'r egwyddorion iachus a broffeswn o'r blaen am ynfyd-

rwydd cyfeiliornus; ac nid oedd genyf ond *un* man i ymgysuro ynddo, sef fy mod yn gobeithio nad oedd yr arferiad halogedig a nodais yn *rheol sefydlog* yn y Dyffryn, ond mai syrthio i'r aflendid a ddarfu i'r Llywydd, ac nis gwyddwn yn y byd pa fodd y gallwn gael y gwirionedd allan. Yn awr, yn fy mhrofedigaeth, acthym i ymweled â gwahanol siroedd y Gogledd, ac nid oedd un dyn ar wyneb y ddaear yn gwybod dim am y terfysg oedd yn fy meddwl; ac yr oeddwn wedi gwneyd diofryd *y mynwn* gael y gwirionedd yn hyn allan, ac os wedi llithro i'r pechod yr oedd y Llywydd yr oeddwn yn penderfynu ei ddiarddel ef, a glynu yn fy mhroffes, ond os oedd hyny yn rheol yn y Dyffryn, yr oeddwn wedi penderfynu eu tynged, sef nad oedd eu holl grefyddoldeb ond dychymyg twyllodrus, y ciliwn oddiwrthynt, ac yr hysbyswn eu dichellion i'r byd.

Yn awr, ar y daith y soniais am dani, ymwelais â Llywydd y Gynhadledd agosaf i'r hon y gwyddwn bod ei Llywydd wedi syrthio yn fy marn i, ond ni ddangosais i hwn ddim o'm helynt, eithr cymerais arnaf fod yn drwyadl Sant, a'm bod yn foddlawn i dderbyn yr oll o'r traddodiadau a ddysgid i mi gan y Llywyddion Ysbrydol. Ac yn ffodus iawn i'm neges efe a amlygodd fod y Llywydd a nodais wedi *dechreu arfer* y goleuni ar oruchwyliaeth y caru, gan dybied nad oeddwn yn gwybod dim; ac amlygodd ei fod yntau hefyd wedi gwneyd yr un modd, gan ddangos mai y llall oedd wedi ei fendithio ef â'r goleuni dedwydd ar y *science* newydd hon. Ond os drwg cynt, gwaeth wedi'n,—yr oeddwn erbyn hyn mor anesmwyth fy nheimladau fel yr oeddwn ar brydiau yn ofni syrthio i

eithafoedd arall, sef i wadu nad *oedd pob math* o gynhyrfiadau crefyddol ond gwallgofrwydd, ac nad oedd waeth anifail na dyn, &c. Aethym yn fy mlaen drachefn, ac ymwelais â Llynlleifiaid; ac yno yn ebrwydd aethym i ymweled a rhai brodyr oeddwn yn adnabod. Ac ar ryw foreu fel yr oeddwn yn myfyrio am y ddysgeidiaeth ryfedd oedd yn fy meddwl, er nad oeddwn eto wedi amlygu unrhyw amheuaeth ynghylch ei dwyfoldeb, cyfarfyddais â swyddog eglwysig, h. y. eglwys y Saint, ac yr oedd i hwn air da, gan ei fod yn gwasanaethu yn awr er's deuddeng mlynedd, ac yr oedd yn hollol gyfarwydd yn holl reolau y Dyffryn, a byddai pa bethau bynag a ddywedai yn oracl gan yr holl eglwys; a mi yn gwybod yr holl bethau hyn, yn awr a afaelais yn y cyfle, fel os gallwn mewn un modd gael gafael ar y prif wrthddrych y cyfeiriwn atto trwy bob peth, sef Gwirionedd. Yn awr aethum i rodio i'r *Docks*; ac yr oeddwn yn methu a deall pa fodd i'w arwain at y pwnc oedd yn fy meddwl, ofnwn ddangos iddo fy amheuaeth, rhag ofn y buasai yn celu y dirgelion oddiwrthyf, pa fodd bynag, cyn pen nemawr o amser, wedi dechreu teithio o honom, efe a ofynodd i mi beth oeddwn yn feddwl o'r "*wraig santaidd.*" Yn awr, gan fod pob peth yn dyfod yn *noble*, mi a ddywedais nas gwyddwn i yn iawn, ond fy mod yn foddlawn derbyn pob peth a dderbynir o'r Dyffryn, ac oddiwrthynt hwythau y Swyddogion—a gofynais a oedd hyny yn rheol yn y Dyffryn? Yntau a sicrhaodd i mi ei bod. Ac yn mhellach, dywedodd wrthyf y gallwn yn eithaf rheolaidd wneuthur cyfammod ag unrhyw enyw cyn myned i Fynydd Sïon, sef Dyffryn yr

Halen, yn Califfornia. Ac efe a'm hysbysodd y byddai raid i mi gadw hyn yn ddirgelaidd i mi fy hun. A gofynodd i mi beth oddwn yn ei feddwl o berthynas i hon a hon iddo ef? Minau a ddywedais fy mod yn barnu mai un rinweddol ydoedd. Ar ol yr ymddiddan hwn aethum adref dan fyfyrio ar y mater, a ffieiddiais y fath ymddygiad melldigedig mewn dyn ag oedd yn un o Henuriaid Eglwys Dduw, (ond maddeued fy narllenydd, Eglwys y cythraul a ddylaswn ddyweyd), ac efe a gymerodd ystafell iddi yn yr un dref ag yr oedd yn byw, sef Liverpool, er fod ganddo wraig ar y pryd; ac a fabwysiadodd un o'i phlant (oblegid gweddw oedd hi) iddo ei hun, ac a'i cymerth i'w gartref ei hun.

Gwelais lythyr yn yr 'Amserau,' am Hydref 15fed, 1851, oddiwrth Mr. W. Phillips, Llywydd Cymru, yn ceisio amddiffyn y gyfundrefn Santaidd; a mi a'i dodaf i mewn er mwyn chwareu teg i bawb farnu drostynt eu hunain, ond ar yr un pryd tystiolaethaf fod amlwreiciaeth yn cael ei ddysgu yn gyffredinol yn y Dyffryn. Wele ei lythyr :—

Mr. Golygydd.—Byddwch chwi mor onest a derbyn amddiffyniad yn gystal a chyhuddiadau o berthynas i Saint y Dyddiau Diweddaf, trwy roddi lle i'r hyn a ganlyn:—Mae amryw o gyhoeddiadau y wlad yn gwneyd cryn dwrw yn bresenol yn nghylch aml-wreigiaeth y Mormoniaid. Honant eu bod wedi derbyn llythyr oddiwrth rywun yn datguddio fod gan y Llywydd Brigham Young, oddeutu pump ar hugain o wragedd; a dywed rhai fod yr un nifer gan Capt. D. Jones hefyd, tra mae ereill yn tystio mai dwy sydd ganddo, a bod un o honynt "yn wraig ysbrydol," yr hon a gymerodd o Sir Gaerfyrddin. Mae y person sydd yn dyweyd hyn yn llygad-dyst, medd y cyhoeddiadau; eithr ofnant roddi ei enw. Mae aml-wreigiaeth y Saint yn hen stori, a gall pawb wybod ei bod yn gelwyddog fel ei thad diafol. Meddyliwn mai y "wraig ysbrydol" yw Mrs. Lewis, gynt o Gydweli, yr hon a ymfudodd yr un pryd a Capt. Jones, gan adael ei gŵr a'i chwaer ar ol i settlo ynghylch materion cyfreithiol, y rhai ni therfynwyd

mewn amser i'r ymfudiad; a chan fod Mrs Lewis, wedi cytuno am le mewn llong i'w theulu, a darparu pob peth, cydsyniodd ei gwr a'i chwaer i aros ar ol hyd yr ymfudiad nesaf, er cael rhyw arian ag oedd yn dyfod iddynt. Darfu i'w gwr a'i chwaer hi ymfudo gyda'r llongiad gyntaf ar eu hol; a chlywsom eu bod wedi ymuno a'r teulu yn y Dyffryn. Nid dyna y celwydd cyntaf am Brigham Young a Capt. Jones, na'r rhai diweddaf ychwaith. Y sawl sydd am wybod sicrwydd mewn perthynas i'r gwirionedd, darllened a ganlyn allan o'r "Athrawiaeth a Chyfamodau," tu dal. 300:—"Yn gymaint a bod eglwys Crist wedi ei gwarthruddo fel o fod yn euog o'r trosedd o odineb ac aml-wreigiaeth, cyhoeddwn ein bod yn credu y dylai un dyn i gael un wraig, ac un fenyw ond un gwr, oddieithr mewn achos o farwolaeth, pan y mae y naill a'r llall at eu rhyddid i briodi eilwaith." Darllened hefyd Ath. a'i Cyf. tu dal. 115:—"Tydi a geri dy wraig a'th holl galon, ac a lyni wrthi hi a neb arall; a'r hwn a edrycho ar wraig i'w chwenychu hi, a wada y ffydd, ac ni chaiff yr ysbryd, ac onid edifarha, efe a deflir allan. Na wna odineb; a'r hwn a wna odineb, ac ni ediferha, a deflir allan; ond yr hwn a wnaeth odineb, ac a edifarha a'i holl galon, ac a'i gadawa, ac ni wna felly mwyach, tydi a faddeui iddo; ond os gwna efe odineb drachefn, ni chaiff faddeuant, eithr a deflir allan." Darllener eto tu dal. 300:—"Dylai priodas gael ei gweinyddu gyda gweddi a diolchgarwch; ac yn y gweinyddiad, y personau sydd i gael eu priodi a safent yn ochrau eu gilydd, y dyn ar y llaw ddeheu, a'r fenyw ar yr aswy, ac a auerchir gan y gweinyddwr, megys ag y cyfarwyddir ef gan yr Ysbryd Santaidd; as os na fydd gwrthwynebiadau cyfreithlawn, caiff ddyweyd, gan alw pob un wrth ei enw, 'Yr ydych chwi eich dau yn cytuno i fod yn gyfeillion i'ch gilydd, yn wr a gwraig, gan barchu iawnderau cyfreithlawn y cyflwr hwn; hyny yw, cadw eich hunain yn gwbl i'ch gilydd, ac oddiwrth bawb ereill, drwy eich bywyd." Ac ar ol iddynt hwy ateb, "Ydym," caiff eu cyhoeddi yn wr a gwraig, ac nid (gwr a gwragedd) yn enw yr Arglwydd Iesu-Grist, a thrwy bwer cyfreithiau y wlad a'r awdurdod a fydd yn ei feddiant; Bydded i Dduw ychwanegu ei fendithion a'ch cadw chwi i gyflawni eich cyfamodau o hyn allan a thros byth. Amen." Mae aml-wreigiaeth yn beth annyoddefol yn yr eglwys, ac ni oddefid llywydd na ueb arall i'w arfer. Y mae yn groes i gyffes ein ffydd ni. Yr ydwyf yn yr eglwys hon ers wyth mlynedd, ac ni chlywais ddysgeidiaeth o'r fath erioed, ac y mae yn drueni ein bod yn cael cam, ac yr ydym yn benderfynol na wnawn oddef ychwaneg. Y mai genym bob parch i chwi a'ch cyhoeddiad, cyn belled ag y mae yn cynwys gwirionedd, ond y mâe y celwyddau sydd ynddo yn ffiaidd genym, a chynghorwn chwi i atal ysgrifeniadau eich cohebwyr rhag ofn i chwi gael eich hunan mewn gofid o'u herwydd.

Yr eiddoch, yn ddidwyll,

WILLIAM PHILLIPS,

14, Castle Street, Merthyr Tydfil.

Yn awr ddarllenydd, mewn perthynas i'r llythyr

uchod, tystiolaethaf fy mod inau wedi bod yn aelod gyda'r Mormoniaid cystal a Mr. Phillips, ond ei fod ef yn Llywydd Cymru, a minau yn Athraw yn eu plith, fod Mr. Phillips yn celu y gwirionedd er mwyn cadw ei gymeriad ei hun i fynu. Ond sicrhaf inau fod *puteindra* yn beth sydd yn cael ei gyflawni yn eu plith yn ddirgelaidd, a'r hwn a

> "Wado hyn aed a hi
> A gwaded i'r haul godi."

Y mae yr awdurdod ucha yn erchi i ni na "chredwn bob ysbryd eithr bod i ni brofi yr ysbrydion." Y mae y Seintiau yn honi yr awdurdod uwchaf. Honwch mai chwi yw yr unig ddysgawdwyr awdurdodedig, a'ch bod wedi derbyn dadguddiedigaethau oddiwrth Dduw! Mai eich Heglwys chwi yn unig ydyw yr un Apostolaidd, ac mai chwi, gweinidogion yr Eglwys hon, yn unig, a feddwch yr unig awdurdod oddiwrth Dduw,—mai Babiloniaid yw pawb eraill. Profais inau yr ysbryd oedd yn ceisio gosod arnaf y fath ysbrydoliaeth a hon,—chwiliais lawer am seiliau eich ysbrydoliaeth—ni wna eich haeriadau mor tro genyf,—Ni fynwn "ymadrodd y rhai sydd yn ymchwyddo, ond eu gallu." Yr oedd yr apostol Paul yn dangos *arwyddion ei apostoliaeth ef* mewn gwerthredoedd nerthol a rhyfeddodau; methais erioed a chael prawf o'ch olyniaeth chwi. Profai y Gwaredwr ei awdurdod i faddeu pechodau, drwy ddywedyd wrth glaf o'r parlys "cyfod a rhodia" yn ngwydd llygaid y bobl. Ond bum gyda chwi amryw droion yn ymweled â chleifion, a bum fy hun yn agos i angau, ac er i bump o Henuriaid osod eu dwylaw arnaf am heneinio âg olew, yn y diwedd, rhaid i mi eich cyhoeddi yn ysprydion twyllodrus, ac yn athrawon gau.

Dywedais wrthyt fy narllenydd fy mod inau wedi bod o dan y dylanwadau dyeithrol, sef proffwydo, &c. ac mai genyf i'th hysbysu, fy mod wedi ymdrechu llawer am gael yr Ysbryd yn ei ddoniau amrywiol. Ond o'r diwedd dechreuasant ddylifo arnaf, ar ol i mi ddeall trwy eu dysgeidiaeth hwy pa fodd i ddechreu. Dywedodd un wrthyf am i mi ymollwng i lefaru, beth bynag a ddaethai i'm meddwl ar y pryd, pe buasai ddim ond "*Careg a thwll,*" a bum mewn cryn ddyryswch oherwydd hyn, pa fodd i gysoni y fath *gaos* ag oedd y Saint yn ei orchymyn arnaf; yr oeddwn mewn gwirionedd yn yr un amgylchiad ag yr oedd y Meddyg pan y dywedodd wrth ei was, fod "Dychymyg yn gwella a dychymyg yn lladd," felly fy narllenydd, rhaid i minau ddyweyd mae dychymyg yw y cwbl mewn perthynas i'r doniau gwyrthiol neu ysbrydol sydd mewn arferiad yn mhlith y Seintiau. Yr ydym yn gwybod fod llawer o ddynion enwog, cyfrifol, a gwir dduwiol, wedi bod yn dychymygu llawer o ffol bethau am danynt eu hunain; megys yr Enwog Irving, yr hwn a dybiai ei fod yn alluog i lefaru â thafod dyeithr—ac y gallai ei esbonio i ereill—ac hefyd y mae yn gof genych am yr hybarch Doctor Watts, pan unwaith y dychymygodd ei fod wedi llyncu Cobbler—ac nid oedd dim a'i darbwyllai o'r grediniaeth ryfedd hon, nes i'w feddyg un prydnhawn, fyned at hen grydd oedd yn gweithio yn agos at ei annedd, a dyweyd fod y Doctor wedi credu ei fod wedi ei lyncu, a gofynodd i'r Cobbler a fyddai efe mor garedig a dyfod gydag ef i'w ystafell, a diogelu ei hun dan wely y Doctor y noswaith hono, a bod yn siwr o roddi ei ffedog o'i flaen; a phan y dywedodd y meddyg y

byddai iddo ef roddi *emmetic* i'r claf, er mwyn iddo daflu i fynu, gorchymynai i'r Crydd fod yn barod i ddyfod allan o dan y gwely, dan ymgropian ar hyd yr ystafell tua'r drws, ac felly y bu, pan y llefodd y Doctor allan "Dacw fo!! Dacw fo!!" ac efe a fu berffaith iach o'r munud hwnw allan. Felly finau fy narllenydd, fy nychymyg oedd y cyfan. "Ciliais o'r ffordd"—gadewais y wir athrawiaeth a ddysgwyd i mi gan fy Nhadau, ac a lwyr wedais ei hathrawiaethau; "a gwnaethym fy ngoreu yn mhob modd, i beri i lawer oedd dramgwyddo wrth y gyfraith," i droi oddwrth y gwirionedd, at hen chwedlau gwrachiaidd, y ffydd Formonaidd.

Y mae synwyr a chydwybod y wlad wedi deffro yn erbyn Mormoniaeth,—eglwys ac offeiriadaeth sydd fel y gwr goludog yn y ddammeg, yn ymwisgo â phorphor a llian main, ac yn cymeryd byd da yn helaethwych beunydd, ar draul trueiniaid sydd yn gweithio yn galed, ac wedi bod bob amser yn fwy o faen tramgwydd ar ffordd llesiant tymhorol ac ysprydol y bobl na dim arall—eglwys ac athrawon sydd weithian yn gwneuthur yr oll a allo i rwymo y genedl draed a dwylaw, a'i thraddodi i feddiant ac awdurdod tywyllwch ag ofergoelion Mormoniath. Mor sicr i chwi a'ch bod yn ffugymhonwyr twyllodrus, a bod yr egwyddorion a geisiwch ddysgu i'r bobl drwy eich pregethau, a thrwy eneuau y ddau lyffaint—'Seren y Saint'—a'r 'Deseret News,' yn "athrawiaethau cythreuliaid" mor sicr a hyn, meddaf, fod dydd gofwy eich heglwys wrth y drysau.

---

THOMAS JONES EVANS, ARGRAFFYDD, CAERNARFON.

